CERDD DDYSG AR

# Y Creawdwr,

GAN LLEW LLWYFO.

---

CERDD GOFFA AR OL

Y DIWEDDAR

## WILLIAM MORRIS,

*SLATE HILL, PA.,*

GAN DEWI DINORWIG.

---

UTICA, N. Y.
T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.
1871.

Cyfansoddiadau Buddugol Eisteddfod Utica, Ionawr 2, 1871.

# Y CREAWDWR.

## CERDD DDYSG, (*DIDACTIC POEM.*)

GAN LLEW LLWYFO.



HEFYD,

## CERDD GOFFA

AM Y DIWEDDAR

# WILLIAM MORRIS,

*WEST BANGOR, PA.*

GAN DEWI DINORWIC.



UTICA, N. Y.
T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.
1871.

# RHAGYMADRODD.

Arfaethir y Rhagymadrodd hwn i'r darllenydd cyffredin, ac nid i'r beirniaid sydd i benderfynu tynged y Bryddest yn y gystadleuaeth. Ni ddylai un cystadleuydd byth ymyraeth a'i feirniaid; ac eto, ni ddylai neb ddanfon dim i gystadleuaeth ar na fwriado i ymddangos ger bron, a derbyn tynged barn y cyhoedd.

Dymuna'r awdwr i'r darllenydd sylwi, a chadw mewn cof, nad oes un syniad athrawiaethol yn araeth un o'r cymeriadau a enwir yn y Bryddest, ar nad oedd, mewn gwirionedd, yn gynwysedig yn mhriod grefyddau y cymeriadau hyny, ac na enwir un llyfr ar nad ydyw eisoes yn hanesyddol. Rhaid eithrio yr Athronydd Cristionogol. Efe yn unig sy ddychymygol. Cofied y darllenydd hefyd mai dau brif ddiben y gerdd ydyw, rhoddi drych cywir o'r hyn a gynwysai rhai o'r prif gredoau a chrefyddau am y Creawdwr, a gwneuthur y cyfan yn is-wasanaethgar i areithiau yr Athronydd Cristionogol; ac fod gofal yr awdwr am fod yn gywir yn y cofnodion, wedi ei arwain i ail-adrodd amryw syniadau a geiriau.

GWELEDYDD.

# Y CREAWDWR.

## CERDD DDYSG,

*(DIDACTIC POEM.)*

I.

MEWN rhyw ber-lewyg gwelais Beth a Fydd;
  Yr hyn i mi ddaeth megys Peth a Fu!—
(Ysprydol dywyniadau weithiau sydd
  Yn treiddio magddu y Dyfodol du!)—
Dadlenwyd i fy yspryd anterth dydd
YR EURAIDD OES, a welwyd gynt trwy ffydd,
  Gan Fardd a Phrophwyd, er y bore y bu
Y Prophwyd cyntaf, yn mhellderoedd cudd
  Yr Amser Gynt, yn canu cyfnod cu
  Yr OES a adlewyrchai'r Wynfa fry.
YSPRYDOEDD fu'n dyheu am ddeall Duw,
  O fore'r byd hyd Deyrnas ein IACHAWDWR,
Oedd mewn Cymmanfa—(gweledigaeth yw!)—
A phwngc CYMMANFA'R EURAIDD OES oedd—Y CREAWDWR.

## II.

ATHRONYDD Cristionogol oedd y Llywydd;—
  Un synodd fyd â'i hyf ddarganfyddiadau
O wirioneddau, fyddant yn dragywydd
  Yn syml a chlir i'r symlaf gyrhaeddiadau;—
Un a gysegrodd ei alluoedd beiddgar
  At ogoneddu Duw, a'i Air, i ddyn;—
Un fu yn cloddio, gyda'i feddwl treiddgar,
  I ddwfn drysorau Meddwl Duw ei Hun;—
Un a watwerid, gan y balch, di ffydd,
  Fel egwan a phlentynaidd goelgrefyddwr;
Ac a erlidid gan y "saint," (y sydd
  Yn awr yn damnio Gwyddon fel Anffyddwr);
Ond un a ddaeth, ar wawr yr EURAIDD OES,
Yn Llywydd ar Gymmanfa Gwyddor, Ffydd, a MOES.

## III.

"Fy mrodyr," meddai'r Llywydd, "cilio wnaeth
Gwyll leni anwybodaeth; weithian daeth
Gwawr dadguddiadau, pan fydd meddwl dyn
Yn gyflawn o ddysgleirdeb Duw ei Hun.
Cawn, bellach, dreiddio trwy bob tragwyddoldeb,
Heb dramgwydd, i gyfrinion Anfeidroldeb.—
Yn awr, ymgynullasom, fel ysprydoedd
  A ddyheuasant lawer am wirionedd,
  Ac a geisiasant roddi pob gogonedd,
Yn ol ein goleu gwan, i Ior y bydoedd,
Gan ddysgu'r byd, cyn deall, fel yn awr
Yr y'm yn deall am y Cread mawr
A'i Awdwr.—Rhodded aml ddysgawdwr
O honoch ei ddysgeidiaeth gynt am y CREAWDWR.

IV.

"Cyn dechreu, rhoddwn offrwm gweddi a chlod
I'r UN, 'Anfeidrol, Annherfynol Fod,'
Hanfod yr Hwn gynhwysa'r gwagle i gyd,—
Pob seren, a phob planed, a phob byd;
Yr Hwn a alwn weithiau'n DAD a DUW !—
Enyned ynom addolgarwch byw,
Tra byddo ein myfyrdod yn ymdroi
Gylch troedfainc ei Fawrhydi, ac yn rho'i
Gwarogaeth mawl creadur i'w GREAWDWR,
Dan nodded haeddiant IESU, ein PRYNIAWDWR!
Ni feiddiwn at ei orsedd ef ddynesu
Heb nawdd ein Brawd—ei Unaf Fab—ein IESU!
Trwy haeddiant a chyfryngdod ein IACHAWDWR,
Caiff syml greadur chwilio a chyfarch ei GREAWDWR!"

V.

"Amen!" ddyrchafai fel peroriaeth ddofn
O blith y ddysglaer dorf, tra'r oedd pob gwedd
Yn dangos parchedigaeth gwyl, heb ofn,
Can's Hyder a deyrnasai ar ei sedd.
Y Llywydd eilwaith:—"Yr holiadau fu
Yn trethu dethol ymenyddiau'r byd
Oedd, Pa le mae? Pa beth? a Phwy yw Duw?
Rhyw reddf grefyddol yn mhob enaid sy';—
Bu'n Seren Ddydd dynoliaeth;—deil o hyd
Yn ei dylanwad a'i dysgleirdeb byw;—
Cymhellydd, neu ffynonell crefydd yw.
Grym yr egwyddor hon wnaeth bob dysgawdwr,
Trwy oesau'r byd yn awdurdodol, hy',
Tra'n dysgu i'w dras a'i oes ddirgelwch y CREAWDWR."

VI.

Pen-Athraw Aiphtaidd a gyfarchai'r llu :—
"Frodyr-Ysprydoedd! yn fy nghrefydd i,
*Osiris* oedd yn cynrychioli o hyd
Weithredol a goddefol allu'r byd.
Yr haul oedd ei arwyddlun. *Typho*, ffawd
Pob Coll a Distryw, oedd ei efaill frawd
(Mewn plentyneiddiwch, duwiau ein dych'mygion
A luosogem, blygion lu ar blygion.)
*Neith* ydoedd Fam y duwiau, ffynhon hael
Benywaidd hân : bu ar ei theml i'w chael
Yr ysgrif hon, a ddodais i fy hun:
'Myfi oedd oll, pell cyn bodolaeth dyn;
Wyf oll yn awr, ac i bob tragwyddoldeb,
Myfi a fyddaf oll fy hun mewn anfeidroldeb!'

VII.

"Ein hathrawiaethau gynt oe'ynt gynil iawn
Am y CREAWDWR, pan oedd dysg a dawn
Yn brin; ond, fy nisgyblion ymhyfhaent;
O radd i radd, yn ddyfnach ddyfnach aent,
Nes cyrhaedd glan Athrawiaeth fawr y DRINDOD,
Er mewn tywyllwch am gyfrinach UNDOD.
*Osiris* ydoedd *gyff* pob tarddiad byw,
Ac *Isis* yn *dderbyniol* ffurf; a'r duw
Fu'n *ddaill*, oedd *Horus*—un o dduwiau ffawd.—
Cofgolofn a gyfodais—cyn i'n brawd,
Sef Abraham, ffyddlonaf ffafryn Duw,
Ymddangos ar esgynlawr dynol ryw,—
Ac arni fy nymuniad, fel dysgawdwr:—
'Fy nisgybl, boed i'th enaid gyrhaedd y CREAWDWR!'

VIII.

Brahminiad a gyfododd. Meddai ef:—
"Credem mai'r *Vedas* ydoedd Llyfr y Nef,
Yr hwn a ddysgai holl-lywyddol Dduw,
Tu hwnt dirnadaeth pob creadur byw;
Ond Anian oll a'i cynrychiolai ef,
Trwy gyrau'r ddaear ac wybrenau'r nef.
Agweddion Anian oeddynt dduwiau is,
Y rhai leihaent mewn bri, o ris i ris.
Yr anwybodus oedd yn ceisio'i dduw
Mewn meini, coed, a dwfr; ond, Enaid byw—
Rhyw Enaid Cyffredinol,—ydoedd nod
Y doeth,—rhyw fywiol, gwirioneddol Fod,
Anfeidrol ddoeth, heb nwyd, rhan, na dechreuad,
Gwneuthurwr, Llywydd, a Chynhalydd mawr y Cread.

IX.

"Nis gallai llygad dynol byth ei ganfod,
Nac un ddysgeidiaeth eglurhau ei hanfod,
Nac un amgyffred, na darfelydd ffraeth,
Ond ei ddarlunio trwy yr hyn a wnaeth,
A'i alw'n YSPRYD CYFRIN, ar wahan
I ddefnydd—Yspryd digyfnewid, glân;
O'r hwn yr hanai, trwy yr hwn parhâi,
Ac at yr hwn pawb—pobpeth—dychwel wn'ai.
Fel y pryf copyn yn cynyrchu ei wê,
Neu'r ddaear yn cynyrchu ffrwyth, Efe,
O hono'i hun, gynyrchai'r cread crwn;
O'r hwn y daeth pob peth, ac at yr hwn
Y dychwel pobpeth eilwaith, pan y daw
Efe yn Unig yn y Gwagle di-ben-draw."

X.

Llefarodd Serimaris y Caldead :- –
"Draw, draw. yn agos i foreuddydd Cread,
Yr oeddym ni yn chwilio i'r Dirgelwch,
A'n didwyll symledd oedd ein diogelwch.
Cyn bod Crist'nogaeth i fendithio'r byd,
Yr oeddym yn parhau, parhau o hyd
I olrhain a dyfalu. Pan y daeth
Goleuni cryfach, hen Galdeaeth aeth
I anghof bron, gan ei hynafiaeth mawr ;
Er hyny, rhai dyfalon sydd yn awr
Yn Wirioneddau : gynt yr oe'ynt yn gudd,
Fel perlau heb eu gweled cyn y dydd ;
Yn awr disgleiriant, wedi eu diosg oll
O'u gwisg o ofergoeledd am yr Oll yn Oll.

XI.

"Cyn bod un blaned trwy y gwagle i gyd;
Cyn creu gronynau defnydd bod na byd ;
Mewn rhyw gyfnodau pell yn Nhragwyddoldeb,
Y Mawredd a ddangosai 'i Anfeidroldeb
Trwy greu is dduwiau : trefnodd waith pob un,
O dan ei uchreolaeth Ef ei Hun.
Credem i'r Bod Goruchaf greu y byd
Mewn rhyw Chwe' Chyfnod o anghyfrif hyd.
Cyfran o'r Dwyfol Fod oedd enaid dyn,
Un ansawdd a'r Goruchaf Mawr ei Hun:
Pan yn ei gyflwr perffaith, meddai edyn,
Y rhai a gollodd mewn rhyw ymddirywiad;
Ryw bryd fe'u caffai'n ol, ac yntau wed'yn
A hedai i orphwyso yn ei bur Ddechreuad."

XII.

"Frodyr!" medd Zoroaster:—"Persia deg
Oedd unwaith yn feithrinfa dysg ddwyfyddol.
O fewn ei llwyni, ac yn ei themlau chweg,
Y Presenoldeb cudd oedd yn arwyddol.
Llyfr Deddfau *Ormuzd—Zandavesta*—ddaeth
I'm meddiant: ynddo darganfyddais i
Ddirgelion creadigaeth, Pwy a wnaeth
Y bydoedd oll, a'n crefydd gyfrin ni.
Credwn im' ddeall trwyddo yr unoliaeth
A feddai'r holl alluoedd creadigol—
Unoliaeth feddai dardd mewn un Bodoliaeth,
Yr Hwn a alwem AMSER ANNHERFYNOL,
O'r Hwn y tarddodd y cyntefig Wawl,
Ac idd yr Hwn yn benaf yr offrymem fawl.

XIII.

"Yr Amser Annherfynol—Prif o hyd—
Oedd tarddell *Ormuzd*, Tad Goleuni'r byd.
Dywedodd AIR, anhyall i feidrolaeth,
A'i Breswyl Gwawl a neidiodd i fodolaeth;
Ac yna creodd lawer o Ysprydoedd,
I gadw puredigaeth trwy y bydoedd.
Yna ysprydion is a greodd Ner,
I lywodraethu'r haul, y lloer, a'r ser,
Yn ol eu graddau. Ni a alwem Khor,
Yr haul, yn Llygad Ormuzd, neu yr Ior.
Ei frawd, sef Arimanes, dynodd wg
Y teyrn, trwy bechod,—ef oedd tad pob drwg;
A'r Arglwydd, Ormuzd, a'i halltudiodd ef
I dywell oror cysgod o drigfanau'r nef.

XIV.

"Pryd hyny y creodd Ormuzd ddaear lawr,
Planedau afrif y ffurfafen fawr,
A disglaer oleuadau'r gwagle i gyd,
Gan drefnu swydd ac amcan i bob byd.
An yna creodd ddwfr ac anifeiliaid,
Y rhai arfaethodd oll i ddyn yn ddeiliaid;
Gan adael dyn yn olaf waith ei law,
Fel coron creadigaeth ddi-ben-draw,
A gwrthddrych gofal yr is-dduwiau i gyd,
Tra yn eu tro yn gweini ar ein byd.
Ar ol cwblhau o Ormuzd greadigaeth,
A gwneuthur trefn i'r cyfan yn weledig,
Cysegrodd gyfnod, yn ei unbenigaeth,
O loddest gyda'r holl ysprydion gwynfydedig."

XV.

Arabiad a anerchai'r dorf yn hyf:—
"Myfi, dan swmbwl rhyw gynhyrfiad cryf,
Yr hwn a gredwn oedd yn ysprydoliaeth,
A geisiais ddangos Achos pob bodoliaeth,
Gan drefnu Cyffes i fy nhras fy hun,
Yr hon a ddaeth yn grefydd i bob un:
'Duw ddwyn y byw o'r marw, a'r marw o'r byw;
Creawdwr daear, nef, a dyn yw Duw;
Mewn gwendid diymadferth creodd ddyn;
Ac wedi gwendid, nerth a wnaeth yn drefn;
Ac wedi nerth, y gwendid dd'ai drachefn,
Efe a grea'r hyn a fyno'i hun:
Yr Unig Ddoeth, Galluog, ydyw ef,—
Y Cyntaf a'r Diweddaf, Arglwydd daear a nef."

XVI.

Xenophon Roegwr, er mai bychan oedd
Yn mhlith sylfaenwyr athrawiaethau coedd,
Enillodd anfarwoldeb fel cofnodydd
Dysgeidiaeth eraill; pery byth ei glodydd.
Lefarodd:—" Pryder cyson a diball
A deimlai Groegwyr, un ar ol y llall,
Am wybod y Gwirionedd. Cewri'r byd,
O oes i oes, bryderent fwy o hyd.
Breuddwydiodd Minos iddo ef fwynhau
Anrhydedd anrheg brid o ddwylaw Iau,
Sef llyfr i'w dywys ef yn ffordd dysgawdwr,
Yn cynwys dadgüddiadau y CREAWDWR;
Ond mewn tywyllwch dudew yr ymboenai,
A than ei faich o ffaeledigrwydd y dihoenai.

XVII.

" Orpheus a ymgymerodd ddweyd wrth ddyn
Am ryw Anfeidrol, Anweledig Un,
Yr hwn gynhwysai yn ei Fod ei hun
Holl hanfod pobpeth; Bod heb ran na gwŷn;
Cyntaf ac Olaf; Achos Creadigaeth,
A'i enw Zëus, Gwrthddrych parchedigaeth.
Thales, ei dyb a draethodd yn ddi lwfr,
Mai unig achos defnydd ydoedd Dwfr.
Anaximenes a'i canlynodd ef
Ond teimlai yn ei enaid dynfa gref
At ryw achosydd bodaeth mwy ysprydol
Na dwfr: o'i fewn fe deimlai nawd wynfydol,
Nas gwyddai beth; ond mewn meddyliol wewyr,
Fe'i galwai'n Fywyd; yna bywyd alwai'n Awyr.

XVIII.

"O'i gylch, yn mhobman, awyr oedd ddi feth;
Ac awyr dybiai'n darddell i bob peth;
Heb awyr, marw; gydag awyr, byw;
Ac yn ei grefydd, awyr wnaeth yn Dduw.
Ond ar ei ol ef Diogenes ddaeth;
A'i feddwl ddrylliodd lawer cadwyn gaeth.
Gofynai: 'Awyr! beth a'i cyfansodda?
Beth a'i cynhyrchodd? Beth—Pwy a'i hadnodda?
Beth ydyw enaid awyr? Onid yw
Y meddwl yn dyheu am amgen Duw?
Nid oes gan awyr ddeall, ac mae'n rhaid
I'r meddwl dynol yn ei hynt di baid
Am Achos peth, gael Deall yn drefniawdwr;
A rhyw Ddeallol Achos ydyw y Creawdwr.'

XIX.

"Gwnaeth Pythagoras Dduw o'r Rhifnod Un,
Yr hwn gynwysai'r cyfan ynddo'i hun;
A'r hwn yn nhybiaeth dywell yr athronydd,
A gynrychiolai ryw Greawdwr llonydd.
Fe allai peth, neu fod, gyfnewid ansawdd,
A phur ronynau wneuthur peth cyfansawdd,
Ond nid oedd gyfnewidiad byth ar hanfod
Rhifnodol unrhyw fod, neu beth, i'w ganfod.
Y gronyn lleiaf, gellid ei leihau,
A'i ranu yn fyrddiynau, a pharhau
I ranu o hyd, pob rhan yn rhanu ei hun;
Er hyny'r gyfran leiaf fyddai'n *un;*
Ac megis y cynwysai *un* yr holl
Rifnodau eraill, *Un* oedd yr Achosol Oll.

XX.

" Ond Socrates, yn ei graffineb mawr,
A dreiddiai'n ddyfnach, a thywynodd gwawr
Gwirionedd ar ei feddwl am GREAWDWR,
CYNHALIWR, a DEDDFRODDWR, a LLYWIAWDWR.
Aristedemus Fychan, athraw coeg,
Oedd gyson wawdiwr duwiau goreu Groeg ;
Ond Socrates a'i dysgai ef mewn pwyll,
Gan ddangos ei resymau gau yn dwyll.
'Aristodemus,' ebai, 'ystyr di fy arch :
A fu rhyw ddyn, am waith, yn haeddu'th barch?'
Aristodemus a atebodd :—'Mwy
Nas gallaf enwi.'—'Rhai o honynt hwy.'—
'Mawrygaf Homer fel Arwrol Fardd,
A Polycetus am faengerfiaeth hardd;
Am Hud a Lledrith, Sophocles lengarol,
A Zeuxis am ei liw-arluniau anghydmarol.'

XXI.

"'Ond, pwy a haeddai benaf fawl y byd,
Ai'r celfyddydwr ffurfiai ddelw fud,
Ddiddeall, a difywyd ; ynte yr un
A greai fod deallgar, byw, fel dyn?'
'Yr olaf;' meddai'r gwawdiwr, 'os nad ffawd
Neu ddamwain. a'i cynhyrchai'—'Na, fy mrawd,'
Medd Socrates, 'na fyn barhau yn ddall ;
Nid oes un ddamwain, nac un ffawd, a all
Gyflawni'r hyn a wnaed mor berffaith. Bod
Perffeithgwbl ac anfeidrol haedda'th glod,
Yr Hwn a greodd ddyn yn ail i Dduw ;
Anadl yr Hwn a'th geidw di yn fyw;
Dy gorph, mor berffaith yn ei holl ddarbodaeth,
A ddengys ddyfais ddwyfol ddoeth rhyw Hollwybodaeth.

XXII.

"'A chlyw, fy nghyfaill! DEALL yw dy fri!
Ai nid oes Ddeall ond dy ddeall di?
Ti wyddost nad yw'th gorph ond cyfran wan
O'r ddaear a ganfyddi yn mhob man;
Na lleithder yr holl ddaear ond defnynau
O'r dwfr sydd trwy y cread diderfynau.
Ai'th enaid sydd, yn unig, wedi d'od
I ti trwy ddamwain? Felly, nid oes fod
Deallol ond dy hunan! Gwel y Cread,
A phobpeth yn mherffeithrwydd ei gyflead;
Pob byd yn gweini yn ei gylch ei hun,
Ac eto yr oll yn gweini ar bob un.
Ai cynyrch damwain ydyw hyn—neu ffawd?
Annheilwng dyb o honot ti dy hun, fy mrawd!'

XXIII.

"Fel yna Socrates. Daeth llawer un
O'i ol, pob un yn chwilio drosto ei hun;
Pob un yn cael cip-olwg, er o bell,
Ar y Gwirionedd, ac yn ceisio gwell
Goleuni, trwy fyfyrdod; ond i gyd
Yn adlewyrchu eu hunain yn eu dysg;—
Tra'n ceisio gwadu eu hunain, hun o hyd
Nodweddai bob athrawiaeth yn eu mysg.
Y manwl Euclid fynai fanwl Fod;
Y pur syniadol Plato fynai Burdeb
A syniad;—pawb yn ymgais am y nod,
Sy'n awr i ni yn dyfod i eglurdeb:
Bum dyst o ingoedd llawer Groegaidd awdwr,
Tra'n ceisio deall a phregethu y CREAWDWR."

XXIV.

Un fu'yn dysgu crefydd gyfareddol
Holl-Dduwiaeth, a ddilynodd:—"Bod Gorseddol,
Nis gallem ei amgyffred ar y pryd,—
Deddf, ac nid Person, dybiem ffurfiai'r byd.
Nis gwadem Dduw, ond gwelem yn ddi feth
Y Presenoldeb Dwyfol yn mhob peth;—
Yn gwgu weithiau yn y cwmwl broch,
Ac yn llefaru yn y daran groch;
Yn gwenu arnom yn ngweniadau'r haul;
Yn sisial cariad yn alawau'r dail;
Yn rhoddi gwrid i'r rhosyn yn y berth;
Yn rhoi i'r trydan ei fuandra a'i nerth:
Dwyfolem Anian oll mewn parchedigaeth,
Heb dybio Duw yn fwy na BYWYD CREADIGAETH."

XXV.

Trachefn y Llywydd:—"Frodyr! gwyn eich byd,
Nad oes yn hwy addoli delwau mud!—
I olwg yr anwarddyn, rhyw fod byw
Oedd Anian: meddai gymhwysterau Duw,
Mewn deall ac anfeidrol nerth, i'w olwg,
A nawdd y Nerth a geisiai ef atolwg.
Yr awyr, dwfr, a'r ddaear dybiai'n fwy
Nag awyr, dwfr, a daear; gwelai trwy
Y cyfan bob sicrhad o YSPRYD certh;
Aeth yntau i addoli ac ofni'r Nerth.
Plentyn oedd ef: nis gallai ddeall Deddf
Nac Achos creadigol; yn ei reddf
Grefyddol, aeth i ofni a chrymu i'r môr,
A'r mynydd, pren, a maen, fel cynrychiolwyr IOR.

XXVI.

"Deall a Gallu yn unig welai ef
Yn ymddangosion daear, môr, a nef.
Pan welai'r ddaiar a'r ffurfafen fry,
A chanfod y planedau yn eu cylchoedd,
Gofynai mewn eiddilwch—Beth, Pwy sy'
Yn Arglwydd ar y ddaear a'i hamgylchoedd?
Pwy roddodd i'r planedau draw eu gwres?
Pwy gynysgaethodd haul â nerth a thes?
Pwy sydd yn tywys lloer trwy 'i llwybrau tawel?
Dwfniasog lais Pwy glywaf yn yr awel?
Cadernid Pwy sydd yn ysgytio'r byd
Mewn daear gryn, gan ymddyrwygo hyd
Y ffurfafenau, mewn taranol lef?—
Nis adwaen, ond mewn delwau cynrychiolaf Ef.'

XXVII.

"Dadblygiad o deimladau'r anwar fyd
Oedd eich crefyddau oll. Dadlenai'r naill
Ar ol y llall rhyw gynydd mawr o hyd;—
Athroniaeth Gristionogol yw y daill.
Bu eich meddyliau oll yn ceisio treiddio
Anhydraidd gyfnod;—chwiliech y DECHREUAD;
Y crebwyll beiddgar geisiai ymlwybreiddio
Ehangder di-ben-draw, pan oedd y Cread
Yn meddwl y CREAWDWR doeth yn gudd,
Megis y gorwedd coedwig, cyn ei geni,
Yn nghwpan mesen;—cyn i'r awyr rydd
Gan chwyfiad aden angel glân ymdonni;—
Pell cyn i adsain ddeffro'r unigfeydd;—
Pan nad oedd neb, na dim, ond DUW yn ei rodfeydd!

## XXVIII.

"Mor fychain oeddym! Bum yn syllu gynt,
Trwy fy chwydd-wydryn, ar drychfilyn gwan
Ar ddalen rhosyn, pan oedd chwa o wynt
Yn 'sgytio ei drigfan, fel y ddaear pan
Yn ngwewyr cyffrawd trydan: ebe fi,
'Mor fychan ydwyt!' Bellach gwyddom ni
Mai dyn oedd fychan, pan gymherid ef
A'r Mawredd sydd trwy gyrau'r ddaear a'r nef;
Pan yr ystyriom angder Ymerodraeth
Ddiderfyn y CREAWDWR, a'i lywodraeth,—
Ehangder mor ddiderfyn, fel y gallai
Y Ceriwb chwyfio ei edyn byth; ond pallai
Gael hyd i'r terfyn: nis rhyfeddwn mwy
I grebwyll gwan creadur fethu treiddio trwy.

## XXIX.

"Swyddogaeth Crebwyll a Gwyddoniaeth yw
Ymchwilio a threiddio i weithredoedd Duw.
Yr hyn a ddeffry grebwyll ydyw ffeithiau,
A ffeithiau a'i meithrinant. Crebwyll weithiau
A fyn gael chwilio, a chwilio'n hyf, am ddeddfau
Sydd uwch na ffeithiau. Beiddgar yw cynheddfau
Hanfodol crebwyll; rhyw Unbenaeth yw;
A mynai ar Wyddoniaeth fod yn llyw:
Gwnai hi'n llawforwyn wasanaethgar iawn,
Ond gwâd ei gallu i ddehongli'n llawn
Ddirgelion Anian;—gwâd ei deddfau hi
Fel unig faes cyfreithlawn darganfyddiad.—
Crebwyll yn benaf a'ch llywyddai chwi,
Tra'n gwneyd crefyddau, mewn aneglur ymwybyddiad.

XXX.

" Y gallu nesaf at weithrediad Gallu
Y PERYDD, ydyw crebwyll; er mai dallu
Y byd a wnai, heb oleu ysprydoliaeth;
O herwydd na fedd ynddo 'i hun fodoliaeth.
Rhai gwagsaw alwent Grebwyll yn *Greawdwr*,
Gan alw'n *Greadigaeth* gerdd yr awdwr.
Y bardd uchelaf, nid Creawdwr yw:
Y mae *o* Dduw, ond nid yw ef *yn* dduw.
Mae un agendor, gymer dragwyddoldeb
I ddyn ei chroesi; byth nid aiff meidroldeb
I'w glân eithafol, - yr agendor sydd
Yn d'rysu Gwyddor, ac yn hawlio ffydd,—
Sef yr agendor sydd rhwng Duw a dyn—
Rhwng y crëedig a'r CREAWDWR Mawr ei Hun.

XXXI.

" Yr hyn a wneir o ddim yw creadigaeth,
A chreadigaeth ydyw crebwyll Duw.
Mewn graddau anfesurol, rhyw debygaeth
Sydd rhwng CREAWDWR a'i greadur byw,
Neu rhwng yr hyn a *wnaed* a'r Hwn a *wnaeth*.
Meddyliol allu dyn o Dduw a ddaeth.
Mae crebwyll dyn yn symud, byw, a bod,
Yn Nghrebwyll anchwiliadwy Bythol Fod.
Ymgymer dyn (a ystyr byd yn ddoeth)
A gwneuthur peiriant, llun, neu gyfrol goeth;
A beirniaid oesau (gredid yn ystyrbwyll)
Ymgrymant mewn gwarogaeth gŵyl i'w grebwyll;
Ond Duw, yn ei hanfodol Allu ei Hun,
*Wna'r dyn* a gyfansodda'r peiriant, llyfr, a'r llun.

XXXII.

" A fynai Ef wneyd *Drama?* Shakspeare ddenfyn
I'w chyfansoddi, er ei fri diderfyn.
Neu, os mŷn Ef wneyd un yn uniongyrchol
Yn eiddo 'i Hun, o nodwedd mwy arddyrchol,
Dechreua gyda gwneyd esgynlawr ang
O fydoedd dirifedi;—arni y sang
Yr holl chwareuwyr;—nid chwareuwyr chwaith;
Hwynt *yw* eu cyfran; maent yn *byw* eu gwaith.
Pob bod, pob byd, pob cysawd trwy y nef,
A chwery ei *fywyd*, sef ei Ddrama Ef.
Ai Telynegion fynai ysgrifenu?
Ei adar a'i wyryfon wna i'w canu.
Gwyddoniaeth y Creawdwr ydyw cynydd
Yr oesoedd: Hanesyddiaeth ydyw ei Awenydd.

XXXIII.

" Pan chwyfiai syniad pur yn meddwl dyn,
Ni fyddai hwnw'n eiddo iddo ei hun:
Nis gwyddai'r syniad, ond ei ganfod wnaeth
O'i fewn yn fyw;—nid ar ei ol yr aeth.
Os ef ei hun a'i creodd, pa'm y synai
Pan syniad newydd odd ei fewn enynai?
Ac nid yw'n fwy o grëwr i *gorpholaeth*,
Neu *ffurf*, y syniad hwnw, na'i *fodolaeth*.
Beth ydyw'r ffurfiau, neu'r cyffelybiadau
Ddefnyddia dyn i ddangos ei syniadau?
Nid ydynt amgen ffurfiau oedl yn Anian;
A'r unig ddarganfyddiad wna ei hunan
Yw, fod y ffurf, neu ffugr, yn datgan syniad;
A'i ddadgan wna trwy ffurf, neu rhyw wrthgyferbyniad.

## XXXIV.

"Ystorfa fawr o ffugrau yw y byd:
O'u plith y dethol dyn ei ladmeryddion.
Y ffugrau y'nt biseri grisial prid
I gadw gloew feddyliau awenyddion.
Gwnaeth y CREAWDWR anian i wasanaethu'r
Creadur, pan y ceisio yntau wneuthur
Cynhyrfion cryf ei enaid yn deimladwy,
Neu wneud ei brif ddarfelydd yn weladwy.
Goleuo'r lamp yn unig raid i ddyn
O fewn y ffurf; ei grebwyll yw'r goleuni;
Ac yna trwy y ffurf disgleiria ei hun,
Tra yntau i ddisgleirio'r ffurf yn gweini;—
Ond Bardd, Awenydd, nid CREAWDWR yw!—
Nid oes GREAWDWR ond yr UN ANFEIDROL DDUW.

## XXXV.

"Nid mynor mud yw cerfwaith y CREAWDWR,
Ond llafarolion byw, ar ddelw eu HAWDWR,
Y rhai a giliant i dragwyddol fro,
Er rhoddi lle i eraill yn eu tro;
Nid fel y'u coller, fel gronynau lluwch,
Ond i'w perffeithio mewn astudfa uwch.
Yr hyn a wnaeth a erys yn ddi lyth,
A'i greadigaeth Ef a bery byth.
A'r hyn a wnaeth, nis gwna Efe drachefn,
Er iddo, ysgatfydd, newid lle a threfn.
Anghyfnewidiol ydyw! Duw yw Ef!
A'i fawredd leinw'r ddaear lawr a'r nef.
Yr hyn a dybiem gynt yn gyfnewidiol,
Oedd droad Dail yr Arfaeth Fawr Anghyfnewidiol.

## XXXVI.

" Yn awr, fy mrodyr, cyn dychwelyd eilwaith
  At ein hefrydion yn yr aml drigfanau
Yn Nhy ein Tad;—mae'r cyfan o'r adeilwaith
  I ni yn rhydd,—y Nefoedd yw'n meddianau;—
Offrymwn, cyn ymadael, lafar lef
O fawl i'r TAD, CREAWDWR daear a nef,—
Yr hen *Te Deum* a ganasem gynt
Mewn blas a hwyl, ar ein daearol hynt:
'Ti Dduw a folwn; Ti a gydnabyddwn yn Arglwydd.
  * * * * * * *
Sanct, Sanct, Sanct, Arglwydd Dduw Sabbaoth!' "
  * * * * * * *
Peroriaeth a ymdonnai trwy y nef;
Yn esmwyth weithiau; weithiau'n daran gref.
Y Weledigaeth giliodd; minau'n awr'
Ymgrymaf mewn gwarogaeth i'm CREAWDWR MAWR.



# CERDD GOFFA

AR OL Y DIWEDDAR

# WILLIAM MORRIS,

*SLATE HILL, PA.*

I.

O! O! William Morris ddiweddodd ei ddiwrnod;
Mae'r newydd galarus yn boenus i mi;
Mae crybwyll ei enw, pan mae yn ei fedurod,
Yn archoll i'm teimlad, mae'm llygaid yn lli';
Mae gwên ei wynebpryd, sirioldeb ei lygad,
Mwyneidd-dra ei dymer, hawddgarwch ei bryd,
Yn ddwfn argraffedig ar lechau fy nheimlad,
Gwnaf iddo alarnad o gariad i gyd.

II.

Os ydyw adgofion, myfyrdod mewn hiraeth,
Yn enyn yr awen, yn gymorth i'r iaith,
Os ydyw serchiadau a hen gydnabyddiaeth
A'r gwrthrych a gofir yn fantais i'r gwaith,
Mae genyf gyflawnder o'r cyfryw ddefnyddiau,
Eu dwyn i Gerdd Goffa sydd orchwyl tra mawr;
O deffro, fy enaid, dewch allan, deimladau,
Gwnawn iddo gof-golofn anfarwol yn awr.

III.

O Angau, trywenaist bur gyfaill diweniaeth,
  Aur delyn y dalaith a fwriaist i fedd;
Ai nid oedd neb arall ddiwallai dy fariaeth,
  Foddlonai dy galon, heddychai dy gledd?
Paham yr archollaist a'th arf y fath galon,
  Arweinydd cantorion rhagoraf y byd,
Yspeiliaist ein cenedl, anurddaist ei choron,
  Ei chân sydd yr awrhon yn gwynion i gyd.

IV.

Pwy geir o hyn allan ar ddydd yr Eisteddfod
  I drefnu y corau ac arwain eu cân?
'R oedd ef yn alluog bob amser a pharod,
  I wneyd â'i ganiadau'r holl dyrfa ar dân;
Ei gerdd ar Wladgarwch, ar ymdaith trwy Georgia,
  A gofir gan ganoedd yn Utica'n awr,
Dan nerth ei dylanwad cydfloeddiodd y dyrfa,
  "GRANT enwog i fyny, rho'wch *Seymour* i lawr."

V.

Ni rodiodd y ddaiar ddyn mwynach ei dymer,
  Heb uchder na balchder, oer brudd-der na brad,
Fel oen yn ei deulu, ymddygai bob amser
  Yn dyner a thirion fel priod a thad;
Ond ar yr areithfwrdd ddydd mawr yr Eisteddfod,
  Gwroldeb belydrai o'i wyneb teg bryd,
A thaflai'n ddidrafferth holl deulu cerdd dafod
  Ar unwaith mewn syndod i'w gysgod i gyd.

D

VI.

Nis gellir argraffu per lafar ei odlau,
Mae sain ei fwyn nodau a'i delyn yn fud,
Ei deimlad brwdfrydig a swyn ei ganiadau,
Dan ddwylaw oer angau a gollwyd i gyd;
Ond adgof y mwyniant a swyn ei ganiadau
A gofir gan luoedd tra pery'r oes hon,
A'i enw anwylir gan fyrdd o galonau.
Mewn hiraeth a thrymder gan brudd der eu bron.

VII.

P'le dysgodd y nodau a'i gwnaeth mor nodedig,
Heb iddo'n arbenig un athraw trwy'r wlad,
Os nad wrth hoff wrando peroriaeth y goedwig
Ar diroedd Bryn Derwen, ger bwthyn ei dad;
Ai'r dyner fwyalchen a'r fronfraith iach galon,
Fu iddo'n athrawon soniarus eu llef,
Neu ynte a glywodd beroriaeth hyfrydlon
Rhyw gor o angelion anwylion y nef?

VIII.

Pan ydoedd yn fachgen iach, gwridog, mal rhosyn,
Yn anwyl a thyner, cyn gadael y fron,
Y "frech goch" a gafodd, a phrofodd yn elyn,
Ca'dd golled trwy 'i fywyd anhyfryd gan hon;
Yspeiliodd ei lygad, anafodd ei olwg,
Ond cadwyd iach ganwyll y llall yn ddinam;
Trugaredd a gafodd, mae hyn yn bur amlwg,
I'r Arglwydd diolchodd, ni feiodd ei fam.

IX.

Genweirio'r afonydd a bachu eogiaid,
Bob adeg allasai, oedd hoffwaith ei dad,
A'i William brydweddol yn cludo'r brithilliaid
Dan ganu per fwynion alawon y wlad;
Pwy wyr nad ei odlau a'i lais oedd yn swyno
Y pysgod i'w wrando, yn fawr ac yn fach?
Beth bynag am hyny, hwy fyddent yn llwyddo
Bob amser yn hynod am bysgod i'w bach.

X.

Pan oedd ond glas lencyn rhagorai fel gweithiwr,
Yn mysg ei gydnabod fe'i perchid trwy'r wlad,
Un medrus, cynyddol oedd ef fel chwarelwr,
Bob amser yn ffyddlon i'w fam ac i'w dad;
O'i febyd trwy 'i fywyd bu'n llwyr ymwrthodwr,
Dros sobrwydd y safai, nid yfai un dafn,
'D oedd neb yn fwy cyson fel cywir ddirwestwr,
Na'i burach fel Cristion yn Nghae-braich-y-cafn.

XI.

Pan gafodd wahoddiad i Lundain i ganu,
Gwn'ai luoedd i synu yn *Exeter Hall*,
Bu ef a'i gor enwog yn godiad i Gymry,
Fe'i gwisgwyd a lawryf cyn dyfod yn ol;
Efe o "hen Walia" yn unig ga'dd alwad,
I ŵyl arddangosiad gorchestion pob gwlad,
Pan ydoedd goreuwyr y byd yn rhoi profiad
O'u rhyfedd wrhydri er enill mawrhad.

XII.

Bu'n canu er symud dyledion addoldai,
A chynal ysgolion i dlodion y wlad,
Gan faint ei haelfrydedd ad-daliad ni fynai,
Gwirfoddol y canai, ni roddai nacâd.
Hir-gofir am dano yn Ninbych a Meirion,
Yn Môn ac yn Arfon fe'i perchir yn hir,
Ni welodd hen Walia ddyn rhwyddach ei galon,
Mae'n anwyl ei gofion, wr tirion, trwy'r tir.

XIII.

Er iddo ymfudo dros moroedd maith, geirwon,
Parhaodd ei fynwes yn gynes o hyd
At hen wlad ei dadau—bu hon yn ei galon
Tra rhodiodd y ddaiar, ddyn hawddgar, o hyd;
Hyfrydwch ei galon oedd cân am hen Gymru,
Gwir garodd y genedl, mawrygodd yr iaith,
Diwyllio'i cherddoriaeth a'i chyfiawn ddyrchafu
Fu enaid ei ganu hyd derfyn ei daith.

XIV.

'R oedd ganddo gry' fwriad ymweled a Chymru,
I rodio hen lwybrau boreuddydd ei oes,
Detholodd ganiadau, dechreuodd ddarparu,
Ond cododd tymestloedd a gwyntoedd yn groes;
Cyn iddo gael cychwyn daeth llestr Marwolaeth,
Dan hwyliau anhyfryd trwm glefyd neu glwy',
A bron yn ddirybudd cymerwyd ef ymaith,—
'R oedd ganddo ddarpariaeth i fordaith oedd fwy.

## XV.

Y rhosyn prydweddol yn yr ardd sydd yn wylo,
  Y gwlith yw y dagrau a fwydent ei rudd;
Dan fantell y ddunos rhyw hiraeth sydd arno,
  Am weled goleuni adlywiol y dydd;
'R un modd y bu yntau yn nyfnder ei gystudd,
  Rhoes aml ochenaid am weled y wawr;
O'r diwedd cyfododd yr haul yn ysplenydd,
  Mewn perffaith oleuni llawenydd mae'n awr.

## XVI.

Ehedodd y newydd ar edyn awelon,
  Tarawyd hen Arfon ar unwaith yn fud;
Dirwasgwyd mynwesau ei anwyl gyfoedion,
  Gan syndod a thrymder a galar i gyd;
Prif destyn ymddyddan trwy ardal Bethesda,
  Oedd marw Will Morris yn alltud o'i wlad;
Gresynent yn ddirfawr na chawsai ei gladdfa
  Yn mynwes hen Walia, yn meddrod ei dad.

## XVII.

Yn Nhalaeth henafol hoff wlad Pennsylvania
  Y treuliodd ei ddyddiau diweddaf mewn hedd;
Ac yno, dan ganu, gorphenodd ei yrfa—
  Mae'n ofid i'm henaid ei fyned i'w fedd:
Awelon y bryniau a'i sïant i huno,
  Y blodau amryliw addurnant y lle;
A dyma'i orphwysfa, ni ddychwel oddiyno
  Hyd ddydd adgyfodiad anwyliaid y ne'.

## XVIII.

Daw'r adar i ganu ar ymdaith ymfudol,
Ryw anthem flynyddol yn deyrnged i'w fedd;
Mae'r llanerch dan ofal yr angel gwarcheidiol,
Fel claddfa Machpelah, er gwaeled ei gwedd;
Drychinoedd yr oesoedd y marmor faluriant,
Try'n llwch y gofgolofn sy'n awr ar ei fedd;
Er hyny cyfodir ei gorff mewn gogoniant,
Dros byth i ail fywyd mewn gwynfyd a hedd.

## XIX.

Enillodd ei deulu ar ddydd ei farwolaeth
Lawn digon ar unwaith o foddion i fyw;
Yr hen addewidion anfeidrol o helaeth
A roddwyd yn rasol a thadol gan Dduw:
"Gad imi d'amddifaid, a byddaf Dad iddynt,
Gofalaf am danynt yn well na thydi;
Wyf Farnwr y gweddwon, fy nghysgod fydd trostynt,
Eu Ceidwad gwastadol anfeidrol wyf fi."

## XX.

Ar bwys yr addewid o enau'r Gwaredwr,
Ein cyfaill dawelodd, newidiodd ei wedd,
Cyflwynodd ei deulu i ddwylaw'r Cyfryngwr,
Boddlonodd i'w dynged o'i fyned i'w fedd;
O boed i'w anwyliaid amddifaid a'i weddw,
Yn wyneb eu trallod ymddiried yn Nuw,
Er colli tad tirion a phriod trwy farw,
Mae'r Noddwr tragwyddol anfarwol yn fyw.

XXI.

Tra rhed rhwng ei glanau yr hen afon Ogwen,
  Trwy ardal Bethesda i fynwes yr aig,
Tra cofir am enw hen ardal Bryn Derwen,
  Tra saif y Garneddwen ar sylfaen y graig,
Bydd cof am bêr-odlau mwyn lais William Morris,
  Ei enw fydd barchus trwy oesoedd y byd,
A phlant ei orwyrion a'i henwant yn hwylus,
  A'i glod yn ddiddarfod fydd hynod o hyd.

XXII.

Fy hoffus hen gyfaill, pa beth oedd dy deimlad
  Pan glywaist ti gyntaf beroriaeth y ne'?
Caraswn gael gwybod pa beth oedd dy brofiad
  Pan unaist â lluoedd gantorion y lle;
Ond rhaid i mi aros heb gael y wybodaeth,
  Er cymaint fy awydd, nes gwelaf dy wedd,
Pan gawn ail gyfarfod mewn gwlad heb farwolaeth,
  Yn undeb ail fywyd mewn hawddfyd a hedd.

DEINIOL, sef
DAVID PRICE, (*Dewi Dinorwig.*)

Williamsburg Iowa.



